# 2

# Y Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol a Chodi Arian Elusennol:

# **Codi arian dan y chwyddwydr**

**Cynhyrchwyd gan:**







FUNDRAISING
REGULATOR
RHEOLEIDDIWR CODI ARIAN

**Adolygwyd gan:**




## Cyflwyniad

Daw'r Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol (y Rheoliad) i rym ar 25 Mai 2018 i ddiweddaru'r fframwaith diogelu data presennol yn y DU. Mae'r ddeddfwriaeth yn cwmpasu pob sector a phob sefydliad - sy'n golygu bod rhaid i bobl mewn gwahanol sefydliadau feddwl am y data y gallent fod yn ei brosesu a rhoi'r egwyddorion ar waith yn eu maes gwaith nhw.

## Beth mae'n rhaid i godwyr arian ei wybod am y Rheoliad?

Os ydych chi'n codi arian ar gyfer elusen, mae'n debyg y byddwch chi'n storio ac yn defnyddio gwybodaeth bersonol unigolion. Gallai hyn ddigwydd wrth gymryd rhoddion a chofnodi cyfeiriadau pobl a'u manylion cyswllt, anfon deunyddiau marchnata uniongyrchol atynt yn y dyfodol neu ddefnyddio gwybodaeth sydd ar gael i'r cyhoedd i ymchwilio a chysylltu â chefnogwyr newydd.

Mae hyn i gyd (a llawer mwy) yn cael ei ystyried fel 'prosesu' data personol o dan y Rheoliad ac mae'n golygu bod rhwymedigaethau a chyfrifoldebau cyfreithiol gennych o ran sut ac i ba ddiben rydych yn defnyddio'r data i sicrhau eich bod yn parchu hawliau preifatrwydd unigolion.

Yn ogystal, ceir rheolau ychwanegol ar gyfathrebu electronig o dan Reoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig 2003, a esbonnir ymhellach isod.

## Marchnata uniongyrchol a'r Rheoliad

Yn achos codwyr arian, mae llawer o'r ffocws yn y Rheoliad wedi'i hoelio ar brosesu data personol ar gyfer marchnata uniongyrchol. Ystyr marchnata uniongyrchol yw anfon neu gyfeirio unrhyw ddeunyddiau hysbysebu neu farchnata at unigolion arbennig, er enghraifft anfon apêl codi arian at rywun yn y post, anfon e-bost at rywun, neu neges testun.

Mae **'deunyddiau hysbysebu neu farchnata'** yn cynnwys unrhyw ddeunyddiau sy'n hyrwyddo nodau ac amcanion y sefydliad - nid dim ond hyrwyddo cynhyrchion neu wasanaethau. Felly os ydych chi'n anfon cylchlythyrau elusennau, apeliadau codi arian neu ddeunyddiau ymgyrchu at bobl trwy ddefnyddio eu manylion cyswllt personol byddwch yn gwneud marchnata uniongyrchol.

O dan y Rheoliad gallwch anfon deunyddiau marchnata uniongyrchol at unigolion dim ond os ydych yn gallu gwneud hynny o dan un o'r seiliau cyfreithlon y mae'r Rheoliad yn ei nodi. Mae 6 sail gyfreithlon, ond yng nghyd-destun codi arian y ddwy sail fwyaf perthnasol ar gyfer elusennau fydd **'cydsyniad'** a **'budd cyfreithlon'** (ond os ydych yn sefydliad gydag aelodaeth neu'n masnachu/gwerthu cynhyrchion efallai y gallwch ddefnyddio un o'r seiliau cyfreithlon eraill).

## Beth sy'n cael ei ystyried yn gydsyniad dilys?

Ystyr cydsyniad yw cynnig dewis a rheolaeth go iawn i unigolion. Er mwyn bod yn ddilys, rhaid i'r cydsyniad gael ei roi o'ch gwirfodd, bod yn benodol ac yn wybodus ac yn arwydd diamwys o ddyluniadau'r unigolyn; ni all fod yn amod o wasanaeth neu gael ei gymryd yn ganiataol trwy weithred o roi. Ni allwch wneud y dewis ar ran unigolion (er enghraifft, ni allwch ddefnyddio blychau wedi'u ticio ymlaen llaw). Mae ffyrdd gwahanol i unigolion allu rhoi eu cydsyniad, megis dewis yr opsiwn 'ie' ar wefan, ticio blwch ar ffurflen bapur, neu ar lafar trwy weithredu (er enghraifft, gall rhoi cerdyn busnes mewn powlen mewn digwyddiad fod yn arwydd o gydsyniad os yw'n glir, trwy wneud hynny, bod unigolyn yn cytuno i glywed mwy am yr elusen).

wybod rhagor am gydsyniad, gweler rhestr wirio'r ICO ar gydsyniad.

## Beth yw budd cyfreithlon?

Mewn rhai amgylchiadau, nid oes rhaid i elusennau gael cydsyniad unigolion i anfon deunyddiau marchnata uniongyrchol. Mae elusennau yn codi arian trwy ddeunyddiau marchnata uniongyrchol, ac mae'r Rheoliad yn ei gwneud hi'n glir y gall marchnata uniongyrchol gael ei ystyried yn fudd cyfreithlon. Budd cyfreithlon yw'r sail gyfreithlon fwyaf hyblyg ar gyfer prosesu ac mae'n debygol o fod yn fwyaf priodol pan fyddwch yn defnyddio data pobl mewn ffyrdd y byddai'n rhesymol iddynt ddisgwyl ac sy'n cael yr effaith leiaf bosibl ar breifatrwydd.

> **DS** - *Gweler isod am y rheolau ar gyfathrebu trwy sianeli gwahanol - nid yw budd cyfreithlon yn sail gyfreithiol ddilys ar gyfer marchnata electronig trwy'r e-bost a negeseuon testun neu alwadau byw i'r rhifau a gofrestrwyd ar y Gwasanaeth Dewis Galwadau Ffôn (TPS).*

Yn achos cydsyniad rhaid i rywun fod wedi dweud 'ie' mewn rhyw ffurf (boed hynny ar-lein trwy dicio blwch, ei roi ar lafar neu drwy weithred gadarnhaol benodol), ond mae budd cyfreithlon yn caniatáu i elusen anfon deunyddiau marchnata uniongyrchol ar yr amod nad yw unigolyn wedi dweud 'na' ac nid yw'n achosi niwed neu'n bwysicach na hawliau preifatrwydd unigolyn. Mae hyn yn golygu bod rhaid i fuddiannau elusen wrth anfon deunyddiau marchnata uniongyrchol gael eu cydbwyso yn erbyn buddiannau'r unigolyn. Os yw'r unigolyn wedi dweud nad yw am dderbyn deunyddiau marchnata uniongyrchol (e.e. trwy dicio blwch optio allan) neu ni fyddai'n rhesymol i'r unigolyn ddisgwyl derbyn deunyddiau marchnata uniongyrchol, yna bydd ei fuddiannau yn bwysicach na'ch budd cyfreithlon chi ac ni allwch eu hanfon. Felly os yw elusen am ddibynnu ar fuddiannau cyfreithlon, rhaid iddi wneud penderfyniad rhesymedig - a ddangosir fel arfer trwy wneud 'ymarfer cydbwyso' sy'n dangos eich bod chi wedi edrych ar y ffactorau perthnasol a'r cyd-destun i sicrhau eich hun eich bod yn defnyddio budd cyfreithlon yn briodol.

I wybod rhagor am fudd cyfreithlon, gweler rhestr wirio'r ICO ar fudd cyfreithlon.

## Peidiwch ag anghofio bod rheolau penodol ar gyfer cyfathrebu electronig

Bydd angen cydsyniad cadarnhaol arnoch ar gyfer negeseuon testun a negeseuon e-bost ar gyfer rhai galwadau o dan Reoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig (PECR) 2003 (darn gwahanol o ddeddfwriaeth i'r Rheoliad). Gweler Canllaw i'r Rheoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig yr ICO i wybod rhagor ynghylch pryd y mae angen cydsyniad arnoch ar gyfer marchnata electronig.

Fodd bynnag, gallwch ddibynnu ar fuddiannau cyfreithlon ar gyfer sianeli marchnata nad ydynt yn ddarostyngedig i'r Rheoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig (megis post a galwadau ffôn byw i rifau heb eu cofrestru gyda'r Gwasanaeth Dewis Galwadau Ffôn, ar yr amod nad yw unrhyw wrthwynebiad wedi cael ei wneud yn y gorffennol). Fodd bynnag, rhaid i chi allu dangos bod y ffordd rydych yn defnyddio data pobl yn gymesur a'i fod yn cael yr effaith leiaf posibl ar breifatrwydd, ac ni fyddai unigolion yn synnu neu'n debygol o wrthwynebu.

## Pa seiliau alla i eu hystyried ar gyfer pob math o gyfathrebu?

Gallwch anfon deunyddiau marchnata uniongyrchol at unigolyn:

TRWY'R POST

1) Os yw'r unigolyn hwnnw wedi rhoi ei gydsyniad cadarnhaol, neu

2) Os gallwch ddangos budd cyfreithlon ac nid yw'r unigolyn wedi gwrthwynebu o'r blaen.

TRWY'R E-BOST, NEGES TESTUN, neu ALWAD FFÔN AWTOMATIG

Os yw'r unigolyn hwnnw wedi rhoi ei gydsyniad cadarnhaol (yn y rhan fwyaf o achosion ni allwch ddibynnu ar fudd cyfreithlon i anfon e-byst codi arian, negeseuon testun neu alwadau ffôn awtomatig; fodd bynnag, pan fyddwch yn anfon cyfathrebiadau budd cyfreithlon i 'danysgrifwyr corfforaethol', gallwch ddefnyddio'r sianeli hyn - mae mwy o fanylion i'w cael ym ***Mhapurau Briffio 4 a 6).***

TRWY ALWAD FFÔN BYW

1) Os yw'r unigolyn hwnnw wedi rhoi ei gydsyniad cadarnhaol, neu

2) Os gallwch ddibynnu ar eich budd cyfreithlon ac nid yw'r unigolyn wedi gwrthwynebu o'r blaen (ond os yw rhif ffôn yr unigolyn ar restr y Gwasanaeth Dewis Galwadau Ffôn byddwch yn gallu ffonio dim ond os ydych wedi cael ei gydsyniad).

## Am faint fydd y cydsyniad yn para neu am faint fyddwn ni'n gallu defnyddio budd cyfreithlon i gyfathrebu â chefnogwyr?

Nid yw'r Rheoliad yn pennu unrhyw derfynau amser penodol o ran am faint y mae'r cydsyniad yn para neu am faint y gallwch chi ddefnyddio budd cyfreithlon, oherwydd bydd hyn yn dibynnu at ba ddiben y mae angen i chi brosesu'r data a beth rydych chi wedi dweud wrth yr unigolyn i esbonio pam mae angen i chi brosesu'r data.

Rhaid i ddata personol gael ei gadw dim ond cyhyd ag y bo angen i gyflawni'r diben y cafodd ei brosesu ar ei gyfer. Felly mae'n rhaid i chi:

- Meddwl yn ofalus am yr holl resymau pam y gallai fod angen i chi brosesu data personol unigolyn.
- Rhoi gwybod i'r unigolyn beth yw'r rhesymau hyn, fel arfer naill ai pan fyddwch yn ceisio cydsyniad neu, yn achos budd cyfreithlon, yn yr wybodaeth preifatrwydd sy'n cael ei rhoi i'r unigolyn ynghylch sut y defnyddir ei ddata (gweler "Hysbysiadau preifatrwydd a hysbysu unigolion" isod).
- Rhoi'r gorau i ddefnyddio'r data os nad yw'ch dibenion gwreiddiol ar gyfer ei brosesu yn gymwys mwyach, neu adnewyddu eich cydsyniad / diweddaru'r wybodaeth preifatrwydd a anfonwch at yr unigolyn o dan y budd cyfreithlon os yw'ch dibenion yn newid.
- Mae'n rhaid i chi roi cyfleoedd hawdd i bobl dynnu ei gydsyniad yn ôl hefyd neu roi'r gorau i glywed gennych a'i adolygu'n barhaus i sicrhau bod eich diben ar gyfer cysylltu â nhw heb newid.

Mae paragraffau 63, 97 a 99 o Swyddfa’r Comisiynydd Gwybodaeth yr Canllawiau Marchnata Uniongyrchol yn amlinellu rhai ffactorau i ystyried pa mor aml i chi adolygu eich cydsyniad efo unigolion neu adnewyddu gwybodaeth preifatrwydd.

## Beth arall y mae angen i godwyr arian ei wybod?

**Hysbysiadau preifatrwydd a hysbysu unigolion**

Mae'n rhaid i unigolion gael gwybod sut y caiff eu data ei ddefnyddio. Felly mae'n rhaid i elusennau gael hysbysiad preifatrwydd clir a hygyrch i'w roi i unigolion a rhoi gwybod iddynt ba ddata rydych am ei gadw a beth rydych am ei wneud gyda'r data a hawliau unigolion o ran y data hwnnw.

Dylai hysbysiadau preifatrwydd fod:

- Yn gryno, yn dryloyw, yn ddealladwy ac yn hawdd ei gyrchu;
- Wedi'u hysgrifennu mewn iaith glir a syml, yn enwedig os ydynt wedi'u cyfeirio at blentyn; ac
- Yn rhad ac am ddim

I gael rhagor o wybodaeth am hysbysiadau preifatrwydd ewch i god ymarfer yr ICO ar hysbysiadau preifatrwydd.

**Dull gweithredu cydgysylltiedig gyda thimau eraill**

Yn aml iawn gall fod cysylltiadau lluosog neu gysylltiadau sy'n gorgyffwrdd gan elusennau ag unigolion. Gall pobl fod yn ddefnyddwyr gwasanaeth neu'n fuddiolwyr elusen yn ogystal â bod yn rhoddwyr, yn wirfoddolwyr neu gymryd rhan mewn ymgyrchoedd. Mae'n bwysig ceisio cael dull gweithredu cyson a chydgysylltiedig ar draws elusen er mwyn i hawliau preifatrwydd unigolion gael eu parchu ac nid ydynt yn cael negeseuon neu ddewisiadau dryslyd neu groes ynghylch marchnata uniongyrchol a chyfathrebiadau.

*Hefyd - Peidiwch ag anghofio bod rhaid i elusennau ddilyn y Cod Ymarfer Codi Arian ar gyfer y safonau sy'n ofynnol gan elusennau sy'n codi arian a osodwyd gan y Rheoleiddiwr Codi Arian. Bydd hyn yn cynnwys rhannau perthnasol o'r Rheoliad, ond hefyd y gofynion pellach y mae'n rhaid i elusennau eu dilyn yn eu gweithgareddau codi arian.*

---

## Cyfeirio ac adnoddau:

### ICO

Canllaw i'r Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol

https://ico.org.uk/for-organisations/guide-to-the-general-data-protection-regulation-gdpr/

Canllaw i'r Rheoliadau Preifatrwydd a Chyfathrebu Electronig

https://ico.org.uk/for-organisations/guide-to-pecr/

### Y Rheoleiddiwr Codi Arian

Cod Ymarfer Codi Arian

https://www.fundraisingregulator.org.uk/code

### CIoF

Y Rheoliad Diogelu Data Cyffredinol: Yr Hanfodion ar gyfer Sefydliadau Codi Arian

https://ciof.org.uk/events-and-training/resources/gdpr-the-essentials

---

## Cefnogwyd gan:


CHARITY COMMISSION FOR ENGLAND AND WALES




Scottish Fundraising Standards Panel









